# Y CATECHISM NEV ATHRAWIaeth Griſtianogawl, rhwn *y mae pob plentyn y ddyſcu*, cyn iddo eſgael y vedydd Epiſcob: neu y dderbyn yr Cummûn bendigedig.




Argraphwyd yn Llundain.
Imprinted at LONDON.
M. DC. XVII. for.

John Hodgets

Th. Z 6 13



# Y CATECHISM

neu athrawiaeth Gristianogawl, *rhwn y mae pob plentyn* y ddyſcu, cyn iddo ef gael y vedydd Epiſcob : neu y dderbyn *yr Cummûn bendigedig.*

HOLI.



Eth yw dy enw di?

ATEP. David. neu W. &c.

*H.* Pwy a roddes y ty yr enw hwnnw?

A. Vyn-hadeu bedydd am mammeû bedydd wrth vy medyddio, pan im gwnaethpwyd yn aelod i Grist, yn blentyn i Dduw ag yn eti-

fedd o deyrnas nef.

*H.* Pa beth a wnaeth dy dadeu bedydd, ath vammeu bedydd yr amser hwnw trossot?

A. Hwy a addawsont ag a eddûnassant yn dy enw i dri pheth: yn gyntaf, mae ymwrthodwn ar Diawl, ai holl weithredoedd balchedd a gorwagedd y byd drwg, a holl pechadurys whantaû y cnawd. Yn ail mae y credwn holl byncaû Fydd Grist. Ag yn drydydd mae y cadwn i, sanctaidddiol wyllys Dûw ai orchmynnion: ag y rhodiwn i ynthynt, holl ddyddiau fy mywyd.

*H.* Anyd wyt i yn tibied dy vod yn rhwymedig i gredû, ag i wneuthyr megis ag y addawsont hwy trosot?

A. Ydwyf yn wir, a thrwy nerth Dûw velly y gwnaf. Ag om calon ydd wyf yn rhoi diolch in Tad Nefawl am iddo dyng alw, i cyfryw y tragwyddol Iechydwriaeth hon trwy Iesu Grist ein Iachawdwr. A mi addeisyfaf ar Dduw roddi i mi râs, modd i gallwyf aros yn y Iechydwrieth hon, oll ddyddiaû dy einioes.

*H.* Adrodd i mi byncïaû dy Fydd?

A. Credû

A. Credû yr wyf yn Nuw, y Tad oll allûog, Creawdwr nef a dayar.

Ag yn Iesu Grist i unig vab ef, yn Arglwydd ni. yr hwn a genetlwyt trwy 'r yspryd glân, ac a aned o Wair forwyn. Y ddioddefodd dan Pontius Pilatus, a groes hoeliwyd, a bû farw ac a gladdwyd. Descenodd i yffern. Y trydydd dydd ve a cyfododd oddiwrth y meirw. Ef a dderchafodd ir nefoedd. Ag y mae ef ein eiste ar ddeheulaw Dduw Dad oll allûog : odd yno y daw i varnû byw a meirw.

Credû ydd wyf yn ir Yspryd glân. Bod Eglwys lân gatholic : Cymmûn y Saint : Maddeuaint pechodeû : ailgyfodiad y cnawd, ar bywyd tragywyddawl. Amen.

*H.* Pa beth yr wyt yn i ddyscû yn bennaf, yn y pynciaû hyn oth Fydd ?

A. Yn gyntaf, ydd wyf yn dyscû credû yn Nuw dad, yr hwn am gwnaeth i ar holl vyd.

Yn ail, y credû yn Nuw vab, yr hwn am prynodd i phob rhyw ddyn.

Yn drydydd, y credû yn Nuw yr Yspryd glân, yr hwn sy yn vy sanctciddio i, ac holl ddewisedig pobl Dduw.

*H.* Ti ddwedaiſt ith dadeû-bedydd ath vameû-bedydd addaw troſot: mae y cedwyd ti orchymynnion Dûw. Dywed gan hynny i mi, pa ſawl vn y ſydd o hanynt?

A. Dec.

*H.* Pa rai ydynt?

A. Y rhai a leſarodd Dûw yn yr vgeinfed bennod o Exodus, gan ddywedyd:

I. Myfi yw'r Arglwydd dy Dduw dy, yr hwn ath dwgodd dy ymaes o dir Egipt, allan o duy y caethiwed. Na vidd y ty dduwiau eraill onyd myfi.

II. Na wna yt dy hûn vn ddelw gerfiedig, na llûn dim ys ydd yn y nefoedd uchod, neu yn y ddaer iſod, nag yn y dyfroedd dan y ddayar: na chrwm iddynt ag na addola hwynt, Cans myfi dy Arglwydd Ddûw di, wyf Ddûw eiddigûs, yn dial pechodaû y tadeu ar y plant, hyd y drydedd ar bedwaredd genhedlaeth or rhai am caſaant i, ac yn dangos trugaredd i vilioedd or rhai am carant i, ac a gadwant ving orchyminion i.

III. Na

III. Na chymer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer, can ny bydd ef yn aneûog gan yr Arglwydd, yr hwn a gymero i enw ef yn ofer.

IIII. Coffa y dydd Sabbath, y cadw ef yn sanctaidd. Chwech diwꝛnod, y cey dy weithio a gwneûthyr dy oll waith: Ond y saithfed dydd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw di. Ar y dydd hwnw, ny chay dy wneuther dym gwaith: tydi, nath vab, nath verch, nath wâs, nath voꝛwyn, nath anivail, na dy ddyn dierth yr hwn a sydd o vewn dy byrth di: Cans mewn chwech diwarnod y gwaneth yr Arglwydd nef a daiar, y môꝛ ac oll y sydd ynthynt, ac y goꝛffwyssawdd y saithved dydd: o erwydd hyn, ve vendithiodd yr Arglwydd y dydd Sabbath, ac ay sanctaeiddiodd ef.

V. Anrhydedda dy dad ath vam, val y bo dy ddyddieu yn hîr ar y tir yr hwn y mae yr Arglwydd dy Dûw, yn rhoddi y ti.

VI Na ladd.

VII. Na wna odineb.

VIII. Na ledrata.

IX. Na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn dy gymydog.

X. Na chwenych duy dy gymydog, na chwenych wraig dy gymydog, nai was, nai forwyn, nai ych, nai asen na dim ysydd yn heiddo dy gymydog.

*H.* Beth yr wyt yn i ddyscu yn bennaf, yn y gorchymynion hyn?

A. Yr ydwyf yn dyscu dau beth: fym dled tû ag at Dduw, am dled tû ag at fing-hymydog.

*H.* Pa beth yw dy ddyled tù ag at Ddûw?

A. Fy-nyled tû ag Dduw yw, y gredû yntho ef, y ofni ef, ag y garû ef am oll galon, am oll feddwl, am holl enaid, ag am holl nerth. y addoli ef, y roddi diolch yddo e, y osod fy holl ymddyried yndo ef, y weddio arno ef, y anrhydeddu y sanctaiddio enw ai air, ag y wasanaethû e yn gowir, holl ddyddiau fy einioes.

*H.* Pa beth yw dy ddyled tu ag at dy Gymodog?

A. Fy-nyled tu ag at fyng-hymodog yw, y garû e fel fy hûnan, ag y wneu-

wnethyr y bob dyn val y dymunwyn wn i, y ddaw yntau, wneuthyr i mineu. y garu, anrhydeddu, a chynnorth fyn hâd am mam. Y anrhydeddu, ag y bod yn ufydd in Brenhin ai swyddogion: Ymddarostwng in hol rheolwir, Athrawir, ysbrydol bugeilied, a meistri. Y ymddwyn vy hûnan yn ostwngedig, gan berchi pawb om gwell. Y wneuthyr drwg i neb mewn gair na gweithred. y bod yn gowir ag yn gyfion ymhob peth a wnelwyf. Na bo na châs na digassedd yn vinghalon ineb y cadw vinwylaw rhac chwilenna a lladrotta, am tavod, rhag dwedyd drwg, celwydd, ag enlhybiaeth. Y Cadw ving-horph mewn cymedroldeb, syberwyd ag honestrwydd. Nyd y chwenychu na dei syf golud neb arall, onid y ddyscu a llavirio mewn modd cowir, y geisio enill vy mowyd, a gwneuthyr a ddylwyf, ym mharyw fuchedd bynag, y gwel Duw vod yn dda im galw am gosfot i.

*H.* Vy anwyl plentyn gwybydd hyn, nad wyt o hanot dy hûn yn abl y wneuthyr y pethau hyn: nag y rhodio yn orchyminion Duw, ai wasanaethy ef, heb y rinweddol râs ef, yr hwn rhaid y

ty ddyſcu beūnydd y alw am danaw trwy ddyval weddi: Am hyny gad y mi glywed os medry ddywedyt gweddi yr Arglwydd.

A. Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, ſancteiddiol a vo dy enw. Deled dy dirnas. Gwneir dy wyllys yn y ddaiar megis ag i mae yn y nefoedd. Dyro y ni heddyw eyn bara beunyddiol. A maddeû y in eyn dyledion, megis i maddeuwn nineû ein dyledwyr. Ag nag arwain ni y brofedigaeth, ond gwared ni rhag drwg. Canys Ti a bieu yr dyrnas, ar Nerth ar gogoniant yn oes oeſoedd. Amen.

*H.* Pa beth ydd wyt ti yn ei erchi ar Dduw yn y weddi hon?

A. Yddw vi yn deiſyf ar dy Arglwydd Dduw ein Tad nefawl, yr hwn yw rhoddwr pob daioni ddanvon y râs y my ag y holl ddewiſiol pobl: val y gallom y anrhydeddû ef, y waſanaethû ef, ag vfyddhau iddo ef megis ag y dylem. Ag yddwyf yn gweddio ar Ddûw y ddanfon y ni bob peth rhwn y ſydd angenrheidol in enidiaû ag in Cyrph: ag y vod yn drugarawg wrthym, ag y vaddeû y ni ein pechodau. A'bod yn teiling

lyng gantho yn cadw an ymddiffin ni ym hob enbeidrwydd ysbrydol, a chorphoral: ag yddo ef yn cadw ni rhag pob pechod a drwgoni, a rhag yn gelin ysbrydol, a rhac angaû tragwiddol. Ag hyn yddwyf i yn gobeithio y gwna ef, oi drugaredd ai ddaioni, trwy eyn Arglwydd Iesu Ghrist. Ag am hyn ydd wyfi yn dywedyd, Amen. velly y bo.

*H.* Pa ſawl Sacrament a ordeiniodd yr Arglwydd yn ei Eglwys?

A. Dau; ac nid oes mwy yn gyffredinol angenrheidiol y Iechydwriaeth; ac rhain yw, Bedydd, a Swpper yr Arglwydd.

*H.* Beth wyt ti yn weddwl wrth y gair Sacrament hwn?

A. Sacrament a yw Arwydd gweledig oddi allan, o ysbrydol râs oddy mewn, yr hwn a ordeiniodd Grist ei hûnan, ag a roddodd i ni, megis modd trwy yr hwn, yr wn i yn derbyn y ybrydol râs ef: ac y bod hefid yn wystl in sicrhâu ni, oi râs bendigedic ef.

*H.* Pa ſawl rhan y ſydd mewn Sacrament?

A. Dwy ran: yr arrwydd gwele-

dic

dic oddiallan : ar ysbrydol anweledic râs oddi fewn.

*H.* Pa beth yw yr arwydd gweledic oddi allan, yn y bedydd?

A. Dwfr: yn yr hwn y drochir y dyn a fedyddyr, neu a dwrir arno y dwfr, yn enw y Tad, ar Mâb, ar ysbryd glân.

*H.* Pa beth yw yr ysbrydol râs oddi vewn? yn y bedydd?

A. Marwolaeth y pechod, ac ail enedigaeth y gyfiawnder: ac o erwydd yn bod ni wrth natûr wedy ein geni mewn pechod, ag yn blant llid, mae Duw yn gwneuthyr ni trwy bedydd yn blant y nefawl ai drag widdol râs.

*H.* Beth a ddymûnyr yn y rhai a ddaw y bedyddio.

A. Bod ynddint, edifeirwch, er ymmado yn hollawl ai pechodau, a Fydd y credû ein wastadol y addewidion Dûw, yr hwn y mae e yn selû yddint yn y Sacrament hon.

*H.* Pa ham ynteu ydd-ydis yn bedyddio yr hai bach ; yr hai oblegit i hoedran, ny allânt gyflawni y pethaû hyn?

A. Mae y rhai bach yn cyflawni y pethaû

pethaû hyn trwy y Tadau ai Mammau bedydd, y meichûon, yrhai sy yn addo ac yn addûno y pethau hyn yn y enwaû hwy: a phan ddelant i lawn oedran, maenhwy yn rhwymedig y hunain, y gwplaû y peth a addawsont wrth eu bedyddio.

*H.* Pa ham y trefnwyd, neu y ordeiniwd Swpper yr Arglwydd?

A. Y ddala ar gof yn wastad, bnic aberth marwolaeth Grist, ar holl ddonniaû ysprydol 'rhain yrwn i yn dderbyn, trwy ei farwolaeth ef.

*H.* Pa beth yw yr rhan o ddiallan, neu yr arwydd gweledic yn Swpper yr Arglwydd?

A. Bara a gwin, yr hwn a orchymynodd yr Arglwydd, y bawb y derbyn.

*H.* Pa beth ywr rhann ysbrydol, oddi vewn, neur peth nefawl a arwyddoccaûr?

A. Corph a gwaed Crist, yr hwn y mae pob dyn ffyddlon, yn cymerid ac yn derbyn yn Swpper yr Arglwydd.

*H.* Pa rai ywr donniaû ysbrydol, or rhain y mae Cryst yn yn-gweuthyr ni yn gyfrannogion yn y Swpper ef.

A. Nerthiant, ac adnewyddiant ein eneidieu

eneidieû. Canys fel y mae y bara yn porthi cyrph, ar gwin yn llawenychû calonneu dynion y bywyd daiarol: felly hefyd y mae corph Crist ai waed bendigedic yn porthi ac yn llawenychû yn y supper, y bywyd tragywyddawl, eneidieû cynifer ac sy yn derbyn y Sacramēt trwy Ffydd, gan gredû y Jesu Grist ddioddef a marw dros y bechodau.

*H.* Pa beth sy angenrheidiol, yr rhai a ddaw yn deilwng i Swpper yr Arglwydd?

A. Rhaid yddynt hwy ymholi ei hunian, beth a wnaethont a chymeryd gwir edifeirwch o eigion ei calonnaû, am y pechodau, ac os ydynt yn bwriadû yn fford ddianwadal y byw rhaglaw, mewn newydd a duwiol buchedd: a bod genthyn Ffydd ddiogel yn rhûgaredd Dduw drwy Grist, a diolchys coffa am y barwolaeth ef, an prynniad ni. Yn ddiwethaf rhaid yddynt edrych yn fanwl, y bod hwy mewn cariad perffaith a phawb.

*FINIS.*

## *Grâs cyn Cinnaw.*

LLygaid pob peth byw, a edrychant attat i o Arglwydd bendigedig : A phan y agory dy law, yr wyt yn cyflawni deisyviad pawb o honynt, trwy roddi yddint eû ymborth yn ei bryd. Edrych y nawr yn rasol arnom i ath llygaid, ag agor dy hael ddaionûs law, a bendithia dy wasaneuthwir ar holl ddoniaû rhain ydym y nawr yn barod y dderbyn oth ddirfawr halieconi di, trwy Iesu Grist ein Harglwydd ni, Amen.

*Ymddyffin o Ddûw rag pob drwg, dy holl Eglwys, ein Brenhin* Iames, *y frenhines, y Tywysoc, ar Deyrnas, a chaniata y ni heddwch a gwirionedd yng Crist Iesu yn Arglwydd. Amen.*

## *Grâs wedy Cinnaw.*

MOliant ac anrhydedd a vo y ti, o Arglwydd nefawl, am yr ymborth

borth a roddest y ni o ddechreûad ein oes, hyd yr awr hon : a megis ag y porthaist i nawr yn cyrph ni a bwyd dayârol : felly ni a atolygwn y ti y borthi ein enidaû a dy fendigedic air y fywyd tragwyddawl. A dyro y ni nerth a grâs felly ith wasaneythû di mewn gwir grefydd yn y byd yma : fel y bo y ni gael bod yn gyfrannogion o lawenydd dy deirnas yn y byd a ddaw, trwy Iesu Grist ein Arglwydd ni. Amen.

*Aralh.*

BRenhin y gogoniant tragwyddawl, a wnel y ni vod yn gyfranogion oi wledd nefawl : trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.



*Grâs cyn Swpper.*

TRagywddawl Ddûw a thrûgaroccaf Dad ; ni ddisyfwin arnat i faddeû y ni ein holl pechodaû, a rhoddi di fendith ar gymmaint o fwyd a diod ac a

paratoest

paratoest i y ni dderbyn er yn porthiant y pryd hyn. Gwna rhain ô Arglwydd ynvoddion y gadw ein cyrph mewn iechyd ac einoes, a gwna ein calonnae niney yn wir ddiolchgar yt i, am dy holl ddoniaû, rhain oth fawr haelioni yr wyt beûnydd yn rhoddi y ni, drwy Iesu Grist ein Harglwydd, Amen.

*A fwyto y fwyd*
*Heb gyfarch ar Ddûw*
*Tebyccach y nefaul*
*Na' Christon maen byw.*



## *Grâs wedy Swpper.*

YNnot i o Arglwydd y rwn i yn byw yn symmyd ag yn bôd : ac y ti y rhoddwn y nawr fawr ddiolch o ddyfnder ein calonnae, am tywall môr garedigol arnom i cynifer oth rhoddion daionûs. Yn enwedic am yn porthy ni môr rassawl ath Creadûrieid y pryd hyn. Caniatha ô nefawl Dad roddi y ni râs fal y gallom trwy nerth y ymborth

fod yn barottach ag yn applach y fyw yn dyolwg di mewn vnion fûchedd, ac y wneûthyr pob gorchwyl da ac a ellom, er gogoniant dy enw bendigedyg trwy Iesu Grist yn Arglwydd ni. Amen.

*Aralh.*

AM ein bwyd an jechyd y fwtta, yr Duw mawr y bo diolch. Dûw a gatwo ei Eglwys, ein Brenhin ar deyrnas, ag a roddo y ni dangnhefydd yng-Hrist Iesu Amen.

TERFYN.

# CYNGOR

## EPISCOB *y bob enaid*

### oddi vewn y *Episcobeth.*

*Fanwyl* blentyn *dere nes* Prov 7. 1.
*Gwrando* gyngor *er dy les*
*'Praw y ddilin trafech byw*
*Dymma r'* fordd *y dyrnas Dduw.*

OFna *Dduw* tro bowyd ynod Deut: 6. 2.
Parcha y *enw* mawr yn wastod:
Galw arno ath holh galon
Gwrando y *air* a chadw *orchmynion.*
Gwa'gel *bechod* er bachaned Math: 5. 19.
Y pechod *llia* a ladd yr ened
,, *Plesser byr a bar hir aleth*
,, *Cyflog pechod yw marwoleth.* Rom: 6.

Or cas *Adda* gymmaint ddial Gen: 3. 17.
Am fwyta tamaid bach o *afal*;
Duw! pa faint a vydd *diale*
Sawl syn *byw* ar cyfriw *vale*?
Tawl ymith *bechod*, na ddymchwela:
Câs ywr *Ci* a fwtto y hwdfa, 2 Pet. 2. 22
Ail yw hwnw yr *Hwch* ddiffaith
El or *dwr yr domen* ilwaith.

Rhwystrwyd *Moysen* y wlad *Canaan* Numb: 20. 12.
*Am* bechy *unwaith* bechod bychan

Bwedd na rwyſtrir pobl ddiffaith
Vind yr *Nef* am bechy *gamwaith*
Iohi 5. 14. Be *Griſt* pan y Iachaodd y claf
Na *phechamwy* rag gwaeth anaf
Luc 11. 26. „ A dro ailwaith y *benv*ûchedd
„ *Gwaeth nai ddechreû vydd y ddiwedd.*

Caſâ *valchedd* megis *Nidir*,
Luc 18. 14. „ *Amdrachaſo fe oſtwngir.*
Ynol *balchedd* y daw *cwdwm*:
Balch y droed, a drip ir gwndwm.
Eſay 14. 15. Or taflodd *Duw* ir *Angel* penna,
Am y falchedd ir pwll iſſa;
Y ble taflir *llywch* a *llwdw*,
A falchio yn *waeth* na hwnw ?

Math: 5. 28. Byth na whenych *wely* aralh,
Y rhwn a gwnel ny d yw ond *angalh*.
Pro: 6. 28. Y Dyn a ſango ar y poeth dân,
Nyd oes lyn na loſco y waddan.
Gen: 12. 17. Or cas *Pharo* blag mor groylon,
Am whenych *Sara* yn y galon;
Pa vath *blag* a *dial* caled,
A gaiff y ſawl a *wnel* y gwaithred ?

Gen: 19. 24. Dialodd Duw drwy *tân* a *brimſton*,
Y brwnty hyn ar ddinas *Sodom*.
Numb: 25. 8. Brathodd *Phineas* drwy y perveth
*Zimri* al *gyfeilals* ddifeth:
Gwagel *dube* rag cael adwyth,
*Y tre neſaf* yn ddyſwmyth.

Golwg

Golwg *Duw* ny ddychni godde,
Shuyt ddyffeithwch a chamwedde.

Pedwar myl ar hygain gint, *Numb: 25.1.9.*
Oblant *Israel* ddrwg y hint:
Marw vy mewn *wharren* anhab,
Am *pytteina* a merched *Moab*.
Or cospodd *Duw* mewn modd mor flin, *2 Sam: 12.10* &c.
Am *oddineb Dauidd* vûrenin;
Pwy mewn *pytteindra* sydd yn byw,
Edryched gwrdd a *dial Duw*.

Tan yw medd *Iob oddineb* lwgwr, *Iob: 31.9,10. 11.12.*
A ddiua epyl pob *pitteinwr*:
A phechod a tyn *ddial* garw,
Y ddywreiddo maint sy helw.
Y sawl a dempta *wraig* cymmodog
Or pechod hyn y vod yn eûog:
Ar y *wraig yntaû* y cair gwalh
Y orvedd dan *ddyffeithwr* aralh.

Ond câs ith galon ag ith sceuain,
A vidde r' *dyn* a wnele *pyttain*
Oth *verch anwyl*. Gway vyn oirydd!
Pam y cynigy mor ddigwylydd
Yrri yn pyttani, *verch* dy *gydfrawd*:
Ai throi ar *golledig anfawd*?
„ *Priodas wely Duw a lwydda* *Heb: 13.4.*
„ *Ond pittainwir Duw a varna.*

Gwachell *dyngû* dim ond *ye*, *Math: 5.37.*
Or *Diawl* y daith holl *ofer lwe*.

 Meltith

Zach: 5. 4. ,, *Meltith Dduw fel mwg a lanw*
,,*Y Twy, lle cablyr Duw aj enw.*

Esay 37. 38. O mwrddrwyd *Senacbrib* y pagan,
Am *gably Duw* ai ddifeth sasan;
Bwedd y dyaink y *Cristnogion*
A dyng myn *gwaed* Crist ai *galon?*

Exod: 20. Er dy fowyd parcha r' *Sûl*,
Dere ir *Eglwys* ar ddydd *gwyl*,
Ar *Dduw* cyfarch, gwachel, loytran.
Na wna r' *Sûl* yn *wyl* y *Satan.*

Num: 15. 35. Or cospodd *Dduw* ar fath ddihenydd,
A gasclodd ar y *sabbath friwydd*;
Bwêdd y pwya bedwar ascwrn
Y droilor *Sûl* yn wacth nar *Sadwrn?*

Luc: 21: 34. Casa fethdod yn dy fowyd,
1 Cor. 6. 10. Nyd aif ir *Nef*, yn *meddw bwdlyd*:
Esay 5. 14. *Vffern* bwll syn lledy sasan
Am gael llwncy r' *meddw aflan.*

Gen. 25. 30. Or colhodd *Esau* Nef yn hollawl,
Am werthy y *fraint* dros ves o *gawl*;
Bodd y palh *Duw* râs ir meddw
Syn gwerthy *Nef* am *pot* o *gwrw?*

Na vidd *gebydd*, na fyn *occor*,
Gen. 22. 15. Cist yr hael y wr *cebydd* angor.
Pro. 28: 8. Y gasclo r' *Tad* trwy *gebyddra*:
*Mab afradûs* ai gwascara.

Luc. 18. 25. Haws ir *camel* vind yn vyan
Ymaa thraw trwy r *nydwydd* vichan,

Nag

Nag ir *cebydd* an rhûgarog,
Vind y *Nef* yr holl *allûog*.

Gwachel driſo neb or *tlodion*, *Pro: 22.22.23.*
*Chriſt* y ſydd y *Ieſtys* cyfion.. *Zach: 7. 10.*
Y driſor *tlawd* main pigo *llygad*,
*Criſt* y hûn y Cadarn Ceidwad.
*Achab* frenin am ddwin gwinllan *1 King: 21.&c.*
*Naboth*, y gymodog trûan:
A gas golly y freniniaeth
Lladd y blant ay *holl* genedleth.

Llûodd *Cwn* y waed yn *Iezrel*, *1 King: 21, 19. 23. &c.*
Bwytawſont *cnawd* frenhines *Iezbel*,
Kyn y *Iehu* ſwitta i' cinno,
Bwttodd *Cwn* yn hollawl honno: *2 King: 9. 34. 35. &c.*
Ond y *thraed*, *ſcwl*, *llaw* a plottoth
*Wreskyn* cam, yn winllan *Naboth*.
,, *Yn olwg Duw peth aner croylon*,
,, *Yw dwyn tythyn y dyn gwirion*!

*Meltith* Ddûw medd *Zachri* Brofwyd *Zach: 5. 2. 3. 4.*
Mewn *mawr lyfyr* a ſcrivenwyd
Yr hwn *veltith* yn' hû' r' *lleidyr*
A ddiua *oll*, y *main* ar *keibyr*
Or daeth *Dives* dan law *Satan* *Luc: 16.*
Am bally r' tlawd oi *dda y hûnan*.
Bodd y dialyr ar *wyr mawron*
Syn dwyn maint ſyn helwr' *tlodion*?

O bob *lledrad* vy anwyl gwyw,
Gwagel ſpeilo *Eglwys* Ddûw.

Na chamddwg dir *cyssegredig*,
Na thal *ddegwm* yn *twilledig*:
Twyllo *Duw* nyd twyllo *Dyn*,
Mayr *cam ddegwmwir* cymain hyn,
Yng *loes angeû* cifri wherw
A wnair am y falstedd hwnw.

Y *nawfed* ran a roddodd *Duw*
Y bob perchen tro vo byw:
Ond cadwodd Duw y *degved* ran,
*Leuit:* 27.30. Vel *etifethiaeth* iddo y hûnan,
32. Ag y *eglwyswir* roes yn *vnig*
*Meddiant* y ran bendigedig:
*Deut.* 26.13.&c Er *porthy* 'neidaû y plwyddolion
A *gair Duw*: a *succror* tlodion.

*Gen:* 14.20. Talodd *Abram* ddegwm spoyl-teg
Y ferirat *Crist Melchizedeg*.
*Gen:* 28.22. Eddûnodd *Iago* o bob peth
A roddai *Duw*, roi *degwm* eilweth.
*Numb:* 18.20. Y lwyth *Leui* pan y rhoddodd
21.&c. Y *fairadeth* Arglwydd nefodd:
*Leuit:* 27.30. &c. Trefnodd cyfraith *Moysen* yfryd
Yddint gael, y *degwm* heuyd.

2 *Cor:* 31.10. Bendithiodd *Duw* ag *amal* râs,
Y fawl yn amser *Ezechias*,
A daloy y *degwm* yn ddifalsteth,
Y vaintaino y wasaneth.
A phan palle r' bobl ddiras
Gint, yn amser *Malachias*,

Taly

Taly *degwm* Duw ir *feirap*:
Achwynodd arnint hwy yn irad. 

Nyd bod yn offrwm cam y *ddyn*, *Mal*: 3. 8. &c.
Ond bod yn speilo *Duw* y hyn.
Bwgwthodd fwrw yn y plith
O herwydd hyn y groylon *veltith*:
Ond vo *vendithian* pawb a ddwgaû *Mal*: 3. 9.
Y *Degwm* sanctaidd y scyboraû. *Vers*: 10. 11.
,, *O tal dy ddegwm, praw dy Ddûw*,
,, *Vo rhydd yt vendith ym bob rhyw*!

Daith *Crist* y *giflawni* r' gyfreth, *Math*: 5. 17.
Canmolawdd *iawn varn* a *thrûgareth*:
Ond gidar *bain* erchodd yng hyd,
Y pawb daly *degwm* heuyd. *Math*: 23. 23.
Fel gynt dan, yr Allor pwis-drwm, 1 *Cor*: 9. 13. 14.
Byw roedd y *feiraid* ar y *degwm*,
Felly medd *Pawl Crist* a trefnodd,
Y vengil-wir vyw ar *vn modd*.

Gwnaed oi *holl* dda yn gyfranog *Gal*: 6. 6, 7.
Pob *Discybul* y *wenidog*:
Sawl nys gwnel medd *Pawl* Apostol,
*Gwatwar Duw*, y may fel hydol.
Gwrendû r' *Arglwydd* lef y gweithwir
Oi ammod *dledûs* pan y twyllir, *Jam*: 5. 4.
,, *Ag am y cam y wneir y Eglwiswr*,
,, *Duw a vidd yn cifiawn varnwr*. *Deut*: 33. 15. *Jer*: 51. 34. 35. &c.

Os y sanctaidd *ddegwm* yw
Y *penna modd* a trefnodd Duw; *Nehem*: 13. 29.

Er

Er maintaino y *anrhydeth*
1 Cor. 9. 14. Y *vengil* wir, ai pûr *wasaneth*:
Gway galoneu r' *fermwir* mawron,
Syn diua *neidaû* e plwyddolion
Drwy droi *degwm* Duw ai *ran*,
Y *porthi* y cyrph ai bolie *hûnan*.

Deut: 33. 11. Sancteiddiodd Duw bob deged frwyth
Deut: 14. 22. Nyd er *dy* gadw dy ath *tûlwyth*,
28. 29. Ond er *porthi neidaû* y blant,
Numb. 18. 21. A chael ym hob Eglwis *voliant*.
Fast dan *lease* y delly yr *Eglwis*
Gwagel golly *lease Paradwis*,
Ny bydd dy lease ond *escûs* gwan
Yn *ydd y varn* am speilo *llan*.

Nehem: 13. 10. A phar *yspil* sy dd môr groylon
11. &c. A *dwyn degwm* y plwyddolion,
A gadel '*neidaû* mewn modd trist
Heb *athrawieth* vengil *Crist*?
Math: 4. 4. Wrth y *Cythrell Crist* a ddwaid
Mae *gair Duw* yw *ymborth* enaid:
Pro: 29. 18. ,, *Ar lle medd Selif ni phregethir*,
,, *Llawer enaid yno a gollir*.

Hos: 4. 6. Mynd medd *Duw* ar *golledigaeth*,
Rom: 1. 16. O ddiffig *gwybod* gwir athrawieth
Rom: 10. 13. 14 Mae vym hobl. Ag os trefnodd
15. 17 *Pregethiad* y air vod y *modd*,
1 Cor: 1. 21. Y *kynnyr* ynom yn ddyammaû,
1 Cor: 3. 5. 
1 Thes: 2. 16. 18. *Fydd* a *Iechadwriaeth* neidaû;
,, *Rhwystrwr*

,, *Rhwystrwr pregethiad gair Dûw*
,, *Y enaid Dyn gelynwr yw.*

O *Ddûw, coffa* am y camwedd, Nehem. 13.10.
Syn *dyfwyino* dy *feiradedd*: 11.29.
Hon oedd weddi *Nehemias*,
N'erbyn *degwm speilwyr* diras.
*Dûw* medd *Moysen, brath trwy llwyne* Deut. 33. 11.
A *speila Levi* oi ddegwmme.
,, *Bydd y speilwr, da eglwysig,* Psal. 83. 11.
,, *Nailh dim plant, neu plant methedig.* 12. &c.

Gwnaeth Duw *Achan* megis sampol, Josh: 7. 21. 24.
Yn *echre r' gyfraith y* hol bobol:
Yn echre heuid *vengil Grist*,
Cas *Ananias* Angeû trist: Act. 5. 1: 2. 3.
Am yddint ddwin drwy falstedd vaith 4. 5.
Y peth y *Ddûw* a roddwyd *vnwaith*.
Gwachlwch *ambyn* tro boch vyw,
Vedlo ar peth a *biau* Dûw.

Gwybyddwch ithe *feiried Dûw*,
Rhai syn derbyn o *bob* rhyw
Y *degued* ran: mae hyn ywch *swydd*, Math: 28. 19.
*Pregethu vengil* ir Arglwydd: 1 Cor: 1 17.
A *porthi neidau* ych plwyddolion, 2 Tim: 4. 1. 2.
A *gair Duw* a *bûchedd vnion*. Act: 20. 28.
Attebwch *rhyw ddydd* am y *gwaed*, 1 Tim: 4. 16. 1 Pet: 5. 2.
Ar *golh* or da neb och *dened*. Ezech: 3.17 18 Act. 20. 26.

Siars *enidau* sawl syn cymryd, Esay 56. 10.
A byw yn *segyr* fel *Cimyd*: Zach: 11. 17.

*Gwaiw*

*Gwaiw* vydd a *dial* cadarn
Ar *enaid hwn*, yn *ydd y varn*.
2 Cor: 9. 16. Gway medd Saint *Pawl* y bob bûgail,
Ny *phregetha Crist* ai vengail,
Ag am golhi *nifer* neidaû,
Colhir *siwr* y enaid *yntau*.

*Portha'th* Deuaid *sûgail* dyfri,
Heb: 13. 17. Raid amdenint wneûthir *cyfri*:
Os *porthû* di, *neida* gwrion;
1 Pet: 5. 4. Rydd ith *enaid* werthvawr *gown*
Dan: 12. 3. *Crist*. Achey vod megis *seren*,
Neûr *hoyl* yn y lâs *firvadden*.
Math: 24. 46. *Gwinvyd* sûgail vidd ith *enaid*,
Pan gwnai *cyfri* am dy *ddevaid*!

Mich: 4: 6. Ond os *newynest* i y neidaû;
*Newyna* Dûw, dy *enaid* di thaû.
Iob: 20. 15. Par ef it *hwdy* oth gwelyddion:
*Prîs y ddegwm* a *gwaed* gwirion.
Math: 24. 50. 51. Daw mewn awr nyd wyt yn tibiad
Christ, y varnû hypocritiâd.
Ynoth poinyr yn *dragwiddol*
Yng *loes angeû* blin vffernol.

Luc: 16: 23, 24. Os llyssc enaid *Dines* vydredd,
Heb vn *deigryn* o drugaredd
Am newyno *corph* neu *gnawd*,
On vn *Lazer* truan tlawd;
Duw! *ba vaint* a vidd y poinaû
Syn newyno *mil* o *neidaû*?

Yr

Yr poen *tosta* ar pwll *issa*:
Taslyr shuyt vigailaid yma. *Math*: 24. 51.

Dedwydd ywr plwyddolion credig.
Syn meddiannûwgwr *discedig*: *Gen*: 20. 7.
A *weddia* trossint beûnydd, 1 *Sam*: 7.8.9.
A *ddisc* yddint *pyncaû y crefydd*, 1 *Sam*: 12:13.
Ag ai *arwain* mewn modd cymwys, *Ier*: 11. 14.
Tuag nefol wlâd *Paradwys*. *Jam*: 5:14.&c.
„ *Hwn anrhydeddwch tro voch byw* *Gal*. 3. 14.
„ *Fel Angel Crist a feirat Dûw*. *Isay*: 61. 6.
2 *Cor*: 5.20.

Pob *Celwyddwr* brawd sy *leydir*, *Eph*: 4.25.&c.
Gwachel *gelwydd* a bydd air-wir:
Y *Cythrel* brwnt ar *Wiber* las *Ioh*: 8.44.
Yw *ben Tad*, y celwydd caas. *Apo*: 22. 15.
Ny chaif vn a *garo gelwydd*
Vynd y vywn *Caersalem* newydd.
Casaa *gelwydd* ym hob rhyw
Or mynd di vod yn vab y Ddûw.

Y wneûthyr *cam* na dderbyn *wabar*, *Exod*: 23. 7. 8.
Does *dim* yn olwg *Dnw* mor hagar. *Deut*: 16.19.20.
Ny aid *wabar* ben na chynffon, *Ezech*: 22. 12.
*Hir* yn helw'th *plant* ath *wyron*. *Deut*: 27.25.
Am *wabar* waedlyd ve ddaw y ti
Y *claf gwân*, a gas *Gehezi*: 2 *King*: 5.
„ A *dial* Dûw am wneuthyr *trâ*, 26. 19.
„ *Plant* a g *eppil* a ddywreidda.

Byth na *lyssenwa* neb er *nam*, *Levit*. 19.14.
Y *dwl* nar *dalb*, y *cloff* nar *cam*: *Deut*: 27. 18.

Duw

Duw a wnaeth y *lyn* ay *liw*,
Pro: 17. 5. Y gablo *dyn* maen cably *Duw*.
Math: 5. 22. Or barn *Criſt* y dan vffernol
Y neb a alwo y *frawd* yn *fol*;
Y ble barna r'neb ſyn galw
Y frawd neû whaer, ar *gamllyſſenw*?

Pro: 20.22. Na thal *ddrwg* dros *ddrwg* y vndyn,
Rom. 12.17. Ormyndi fod y *Ddûw* yn blentyn.
1 Theſ. 5.15. Na wna *gam* ag vn rhyw *Griſton*,
1 Pet. 3.9. Help'os *gelly* dy *elynnion*.
Pro: 25. 21. Pa rhagoriaeth ſydd rhwng *Criſton*
Rom: 12.20. Ar vn gawytha or *Iddewon*;
Mat: 5.38.39. Or dae daly *drwg* am *ddrwg*,
Rom: 12.21. *Dant* am *ddant*, a *gwg* am *wg*.

Gwachel wneûthyr *drwg* ar hyder
Cael *trugaredd* pyn ith *varner*,
2 Cor. 6. 2. Tra *pary bowyd* cynnig *gras*
( Y mae Duw ) ai nefal *dyrnas*;
Heb: 9. 27. Wedy *angeû* heb' *ddyveirwch*
Bydd ond *barne*, a *phoen* an jalwch.
Math. 12. 36. Am *air ovêr* os attebyr?
Am *gam weithred* bodd yth barnyr?

2 Cor: 6. 1. 3. Na cham arfer neb or doniaû
Roes dy nefol *Dad* y tithaû
Math: 25. 19. Fe ddawr' *dydd* y gorfydd rhoddi
2 Cor: 5. 10. Am bob *talent*, rif a chyfri.
1 Pet: 4. 5. Os towlyr yr *twwllwch* itha
Math: 25 30. Y *dalent*, ſawl ny angwhanega;

Blo

Blerar' *dyn* y *cwbwl* droyla
Mewn *cyfraith, methdod* a *phûtteindra?*



Pob *pechadir* nawr a veder *Math: 26. 72.*
Dingy *nydon* gyda *Pheder*,
Dylin *Noe* wna hwn mewn *methdod*; *Gen: 9. 21.*
Gwna *lanaſſwr Pawl* yn waſcod; *Act: 8. 3.*
Dylin aralh *Ddanidd* Brofwyd *Act: 9. 1.*
Mewn *oddineb*, lle gwradwyddwyd: *2 Sam: 11. 4.*
Lle dylent ddylin ſampl *Saintaû*
Yn y gwir *ddivarûs* ddigraû. *2 Sam: 12. 13. 21.*

*Luc: 22. 62.*
Dwâed *ynfyd* drwy y' *waeg* fydd,
Byt vay *mai*, yn fwy na *mynydd:*
*Canmwy* yw trugaredd *Criſt*,
Ve vadde *bawb* ny vyddaf driſt.
Gwir. Mae *Criſt* yn *llawn* trûgaredd *Eſay 59. 20.*
Y bob dyn a *wello* y fûchedd: *Act: 2. 38.*
Ond yr dyn *ny wella* y vywyd; *2 Theſſ. 1. 7. 8. 9*
*Barnwr* croylon yw *Criſt* hevyd.

Yr *nailh* leidyr rhodd *Paradwys*, *Luc: 23. 43. &c*
Trodd or *cam* yr *fydd* mor gwmwys:
Ond vo varnodd yr twwllwch
*Llalh* o ddiffig *ediueirwch*.
Tro gidar *nailh* er cael *trûgaredd*,
Gad y *llalh* rog cael y *ddywedd*.
„ *Yr rhai fyddlon edyveirol*, *Iſay 55. 7.*
„ *Y bydd Criſt yn unig raſſol.* *Joh. 3. 36.*

yn
Bydd di *barod* yn waſtadol *Math: 25. 4.*
Ag *oyl* ith *lamp*, ath *wiſc briodol*: *Math. 22. 12.*
*Aſo: 19. 8.*

Y

Y vynd o flaen dy *varnwr* prydd,
*Fory* yscatvydd ydwyr *dydd*.
Math: 25.10. Or cayodd *Crist y* porth mor ebrwydd
Nerbyn sawl oedd '*mron* parodrwydd;
Pa vodd y cânt hwy *borth agored*
S'eb *ym-gwiro* er pan *ganed*?
Rom: 13.11.12. Ymmyth bellach a *phibiaeth*,
Meddwl am dy *Iechadwriaeth*:
F'orfydd brwssio pawb o ddyma
Yr *Nef* ywch ben, neu'*Vffern* issa.
Luc: 13. 24. On'd aiff *neb* yr Nef heb *wthio*
Heb: 13. 4. *Hwssy gwaydy* a *gweddio*;
1 Pet: 4. 18. Bwedd 'ymdery neb syn *credu*
R'ant yr Nef, wrth *whare a chyscu*?
2 Tim: 2 5 &c. Cyn cael *cynglwst* rhaid *ymdrechy*,
Apoc: 22. 12. Cyn cael *cyflog* rhaid *gwsnaithy*,
2 Tim: 4.7,8. Ny rydd *Crist* y neb oy *Goron*
1 Tim: 6. 12. Ond orchfygo y *elynion*;
Apoc: 3. 21. Y neb, ny rydd *gêmog fechan*,
Math. 20.8,9. Ond a *weitho* yn y *winllan*.
„ *Byrr yw dy fowyd, mawr ywth waith*
„ *Ffryst' cyn Angeu yth dwyn ymaith*.
Math. 7. 21. Ny wna llevein *Arglwydd Arglwydd*
Yng loes *Angeu*, neb yn *ddedwydd*:
1 Cor: 7. 19. Ond rhaid *gwneuthyr* mewn modd
1 Thes. 4. 3. *Deddve Duw* ai *sanctaidd wllys*. (gweddis
Heb: 12. 14. Cevaist *nawr* vyng *hyngor* gorau,
Disyfaf *un peth* arnat *ithau*:
Pro: 22. 17. „ *Os myndi yn dragwyddol vyw*
18.19.20.21. „ *Ving hyngor dylin, er mwyn Duw*.

*TERFYN.*